# Helpu i sicrhau system decach ar gyfer y dreth gyngor Nghymru



cyngor ar bopeth
citizens advice

# Crynodeb

## Beth yw'r broblem?

Mae sefyllfa ariannol aelwydydd wedi cael ei tharo'n galed gan yr argyfwng Covid-19, sy'n golygu bod llawer o bobl yng Nghymru yn ei chael hi'n anodd talu biliau'r dreth gyngor.

**Rydym ni'n amcangyfrif bod 64,000 o aelwydydd yng Nghymru wedi mynd ar ei hôl hi o ran taliadau'r dreth gyngor ers dechrau'r argyfwng**. Mae ymchwil Cyngor ar Bopeth wedi dangos o'r blaen nad yw llawer o bobl sydd ag ôl-ddyledion y dreth gyngor yn gallu fforddio eu biliau, yn hytrach na'u bod yn osgoi talu yn fwriadol.[1]

Mae'r rheoliadau presennol sy'n llywodraethu casglu'r dreth gyngor yng Nghymru yn gwthio cynghorau i ddefnyddio dulliau casglu a all waethygu problemau dyled. Mae taliadau a ffioedd ychwanegol yn golygu y gall dyledion fynd allan o reolaeth, tra bod defnyddio beilïaid yn achosi trallod diangen i bobl sy'n agored i niwed.

Er bod Cynllun Gostyngiadau'r Dreth Gyngor yn ffynhonnell hanfodol o gymorth, nid yw bob amser yn effeithiol o ran cefnogi pobl ar incwm isel i fodloni eu rhwymedigaeth mewn perthynas â'r dreth gyngor.

## Beth sydd angen ei newid?

Mae sawl newid allweddol y dylai Llywodraeth nesaf Cymru eu gwneud er mwyn cefnogi pobl sy'n ei chael hi'n anodd talu biliau'r dreth gyngor.

1. **Gwerthuso effaith Protocol Treth Gyngor Cymru**, ac ymrwymo i osod y mesurau gwirfoddol y mae'n eu cynnwys ar sail statudol os oes tystiolaeth nad yw Awdurdodau Lleol yn gweithredu'r protocol yn ymarferol.
2. **Newid y rheoliadau sy'n llywodraethu casglu'r dreth gyngor er mwyn sicrhau nad ydyn nhw'n gwthio pobl ymhellach i ddyled.**
    - Atal y broses o wneud y bil am y flwyddyn yn ddyledus ar ôl i rywun fethu â gwneud un taliad
    - Rhoi mwy o bwerau i gynghorau gasglu dyled mewn ffordd deg heb gael gorchymyn dyled yn gyntaf
3. **Manteisio i'r eithaf ar y cymorth a ddarperir i aelwydydd incwm isel drwy Gynllun Gostyngiadau'r Dreth Gyngor.**

1. Cyngor ar Bopeth, The Costs of Collection, Ebrill 2019

# Mae arferion casglu gwael hefyd yn achosi trallod diangen

Gall dulliau casglu cyfredol ar gyfer ôl-ddyledion y dreth gyngor wneud dyled yn amhosibl ei rheoli. Gall hyn waethygu effaith dyled ar iechyd meddwl pobl a chael sgil-effeithiau mewn meysydd eraill o fywydau pobl.[17]

Mae uwchgyfeirio cyflym i weithdrefnau'r llys yn gyflym a'r bygythiad o gamau gorfodi ar gyfer ôl-ddyledion y dreth gyngor yn golygu bod pobl yn mynd i banig ynghylch sut i ad-dalu. Mae defnyddio beilïaid i adennill ôl-ddyledion yn arbennig o niweidiol lle mae gan rywun broblemau iechyd meddwl neu os yw'n byw mewn sefyllfa agored i niwed.

Er bod Protocol Treth Gyngor Cymru yn cydnabod yr angen am gymorth ychwanegol i helpu cwsmeriaid sy'n agored i niwed, rydym yn parhau i weld achosion lle nad yw beilïaid yn gweithredu'n briodol.

17. Cyngor ar Bopeth, The Costs of Collection, Ebrill 2019
18. Cyngor ar Bopeth Cymru, Effaith Bosibl Coronafeirws ar Ôl-ddyledion y Dreth Gyngor, Ebrill 2020
19. Mae'r ffigurau'n deillio o arolwg a gynhaliwyd gan YouGov Plc ar ran Cyngor ar Bopeth rhwng 22 Hydref a 2 Tachwedd 2020

## Stori Ana

Mae Ana yn byw yn y De gyda'i phlant sydd yn eu harddegau. Nid yw Ana yn gallu gweithio oherwydd y cyfyngiadau symud coronafeirws ac mae'n byw ar incwm isel iawn. Mae hyn wedi achosi i Ana fynd ar ei hôl hi o ran taliadau'r dreth gyngor eleni.

Nid oes gan Ana unrhyw ddyledion eraill ac mae hi eisiau ad-dalu ei hôl-ddyledion, ond gwrthododd y cyngor lleol y cynnig ad-dalu a fyddai'n fforddiadwy i Ana ar hyn o bryd. Er bod rhai awdurdodau lleol yn oedi gweithredu camau gorfodi, cafodd dyled Ana ei throsglwyddo i asiantau gorfodi sydd wedi dod i'w chartref dro ar ôl tro ac wedi ceisio mynd i mewn drwy ddrysau blaen a chefn y tŷ i fynd â nwyddau.

Yn ddiweddar, collodd Ana ei thad i'r coronafeirws ac mae hi'n galaru ynghyd â phroblemau iechyd meddwl oedd yn bodoli'n barod. Mae ymweliadau gan asiantau gorfodi yn gwaethygu gorbryder Ana ac yn ei gwneud hi'n anodd iddi reoli'r sefyllfa.



Mae pobl sy'n dioddef anawsterau iechyd meddwl bron deirgwaith yn fwy tebygol o fod wedi colli taliad y dreth gyngor yn ystod y ddwy flynedd ddiwethaf.[18]



Ers yr argyfwng coronafeirws, mae pobl â chyflyrau iechyd meddwl cyfyngol wedi bod ddwywaith mor debygol o fynd i ddyled.[19]

# Mae'r pandemig Covid-19 yn golygu bod aelwydydd yn ei chael hi'n anodd talu eu biliau

Hyd yn oed cyn y pandemig coronafeirws, roedd 1 o bob 7 person yng Nghymru yn dweud eu bod wedi cael trafferth talu eu biliau treth gyngor.[2] Mae'r argyfwng coronafeirws wedi golygu bod llawer o aelwydydd wedi colli swyddi neu wedi gweld eu hincwm yn gostwng. Gwelodd 2 o bob 5 (42%) person yng Nghymru ostyngiad yn incwm eu haelwyd oherwydd yr argyfwng,[3] ac mae 125,000 yn fwy o bobl yn hawlio Credyd Cynhwysol o gymharu â chyn y pandemig.[4]

Mae hyn yn golygu bod mwy o bobl yn ei chael hi'n anodd talu eu biliau aelwyd. Ym mis Tachwedd, gwelsom fod tua 64,000 o aelwydydd ar ei hôl hi o ran biliau'r dreth gyngor ers dechrau'r pandemig, gydag ôl-ddyledion gwerth tua £13 miliwn.[5] Mae Cymdeithas Llywodraeth Leol Cymru wedi adrodd ei bod yn disgwyl gweld tua £25 miliwn yn llai o dreth gyngor yn cael ei chasglu yng Nghymru yn sgil yr argyfwng eleni.[6]

Mae rhai grwpiau'n fwy tebygol o fod wedi cronni dyledion biliau aelwyd. Mae ein hymchwil yn dangos bod teuluoedd â phlant, pobl sy'n ddi-waith neu sydd wedi gweld effaith negyddol yr argyfwng ar eu gwaith a'r rhai ag anabledd neu gyflwr iechyd hirdymor yn fwy tebygol o fod ar ei hôl hi o ran biliau'r aelwyd.[7] Wrth i'r cynlluniau diogelu swyddi ddod i ben ac wrth i'r cynnydd o £20 i hawlwyr Credyd Cynhwysol gael ei dynnu'n ôl yn yr haf, bydd llawer mwy o aelwydydd yn derbyn incwm llawer llai. Bydd hyn yn debygol o effeithio'n anghymesur ar aelwydydd ar incwm isel hefyd.[8]

2. Cygor ar Bopeth Cymru, Effaith Bosibl Coronafeirws ar Ôl-ddyledion y Dreth Gyngor, Ebrill 2020
3. Cyngor ar Bopeth Cymru, Facing the cliff edge, Mai 2020
4. DWP, People on Universal Credit, Chwefror 2021
5. Cyngor ar Bopeth Cymru, Coronavirus Debts Wales, Tachwedd 2020
6. Tystiolaeth CLlLC i Ymchwiliad ELGC i Covid-19 a'i effaith, Gorffennaf 2020
7. Cyngor ar Bopeth Cymru, Coronavirus Debts Wales, Tachwedd 2020
8. Policy in Practice, Deall effaith Covid-19 ar Gynllun Gostyngiadau'r Dreth Gyngor yng Nghymru: Canlyniadau Interim, Chwefror 2020
9. Comisiynodd Cyngor ar Bopeth YouGov i gynnal ymchwil arolwg ar-lein, a gynhaliwyd rhwng 22 Hydref a 2 Tachwedd 2020.

## Ers dechrau'r pandemig

**Mae 7 o bob 10 person** sydd wedi mynd i ôl-ddyledion y dreth gyngor hefyd wedi mynd ar ei hôl hi o ran biliau eraill yr aelwyd, fel rhent neu gyfleustodau.

**Mae 1 o bob 3 pherson** sydd ag ôl-ddyledion y dreth gyngor yn dweud nad ydyn nhw wedi gallu fforddio bwyd na phethau angenrheidiol eraill

Roedd pobl a welodd **newid negyddol i'w cyflogaeth** 2.5 gwaith yn fwy tebygol o ddweud eu bod ar ei hôl hi gyda biliau'r dreth gyngor.[9]

# Gall arferion casglu waethygu problemau dyled

Mae'r rheoliadau presennol sy'n llywodraethu casglu dyledion y dreth gyngor yn gwthio cynghorau i ddefnyddio dulliau casglu a all waethygu problemau dyled, yn hytrach na helpu i roi pobl ar y trywydd iawn gyda'u harian. Y rheswm am hyn yw:

- **Mae bil llawn y flwyddyn yn gallu dod yn ddyledus yn syth pan fo pobl yn methu â gwneud un taliad y dreth gyngor**. Mae hyn yn golygu y gall methu â gwneud un taliad gynyddu dyled rhywun yn sylweddol, ac mae hyn yn ei wneud yn fwy tebygol o wynebu bod yn destun gweithredu gan feilïaid.
- **Pwerau cyfyngedig sydd gan gynghorau i adennill dyled heb gael gorchymyn llys.** Mae hyn yn gwthio cynghorau i ddefnyddio proses y llys yn gyflym iawn ac, yn aml, mae hyn yn golygu costau ychwanegol i bobl.
- **Mae pwysau i gasglu ôl-ddyledion yn gyflym yn golygu bod cynghorau'n cyfeirio dyledion at feilïaid yn rheolaidd.** Mae'r broses hon yn ychwanegu ffioedd ychwanegol at ddyledion pobl, a gall achosi trallod sylweddol.

Er bod aelwydydd incwm isel a phobl sydd mewn trafferthion ariannol difrifol yn fwy tebygol o gael trafferthion gyda thaliadau'r dreth gyngor, nid yw'r ffordd y cesglir dyled y dreth gyngor yn ystyried hyn.

## Protocol Treth Gyngor Cymru

Roedd creu **Protocol Treth Gyngor Cymru** yn ddatblygiad i'w groesawu gan ei fod yn cydnabod yr angen am broses decach o ran casglu ôl-ddyledion y dreth gyngor.[10]

Mae'r protocol yn rhoi canllawiau i awdurdodau lleol ar sut i ddelio â dyled y dreth gyngor er mwyn osgoi niwed diangen neu ddyledion yn gwaethygu drwy ganllawiau megis:

- Annog cynlluniau ad-dalu fforddiadwy sy'n ystyried incwm y dyledwr.
- Oedi camau gorfodi lle nodir bod person mewn sefyllfa agored i niwed.
- Darparu gwybodaeth glir ar wefannau awdurdodau lleol am brosesau casglu'r dreth gyngor a'r cymorth dyled sydd ar gael.

Er gwaethaf hyn, mae profiadau cleientiaid Cyngor ar Bopeth yn awgrymu bod llawer o bobl yn parhau i wynebu problemau oherwydd y ffordd y cesglir y Dreth Gyngor.

Gan fod y protocol yn wirfoddol, nid oes cyfrifoldeb statudol o hyd ar Awdurdodau Lleol i orfodi ôl-ddyledion y dreth gyngor mewn ffordd nad yw'n gwthio pobl ymhellach i ddyled. Mae hyn yn golygu bod pobl sydd mewn trafferthion ariannol difrifol yn dal i fod yn wynebu risg o weld eu problemau'n gwaethygu o ganlyniad i arferion casglu.

10. CLlLC, Protocol Treth Gyngor Cymru, Ebrill 2019

# Mae ffioedd a thaliadau yn gwthio pobl ymhellach i ddyled

Mae ymchwil Cyngor ar Bopeth wedi dangos y gall dulliau casglu achosi i ddyledion y dreth gyngor fynd allan o reolaeth.[11]

Yng Nghymru, gall cael gorchymyn dyled drwy'r llysoedd ychwanegu tâl o hyd at £70[12], a gall ffioedd beili gostio hyd at £310.[13] Yn ogystal, os daw bil blwyddyn lawn rhywun yn ddyledus ar ôl iddo fethu â gwneud taliad, bydd y swm sy'n ddyledus ar unwaith yn cynyddu'n sylweddol. Mae hyn i gyd yn golygu y gallai colli taliad gwreiddiol o £159 arwain at gyfanswm dyled o dros £2,000.

Gan ddefnyddio incwm gwario cyfartalog cleient dyled treth gyngor Cyngor ar Bopeth, **gallai'r ffioedd ychwanegol yn unig gymryd tua 24 mis i'w talu**.




**Ffigur 1: Sut mae dyledion y dreth gyngor yn cael eu cynyddu drwy'r broses gasglu**

## Mae bod ar ei hôl hi gyda thaliadau'r dreth gyngor yn aml yn arwydd o drafferthion ariannol ehangach

Mae llawer o bobl sydd ar ei hôl hi o ran eu treth gyngor mewn trafferthion ariannol neu'n byw mewn sefyllfa agored i niwed. Mae ymchwil gan Ganolfan Polisi Cyhoeddus Cymru wedi amlinellu'r prif resymau pam mae pobl yn cronni dyledion gwasanaethau cyhoeddus, gan gynnwys colli swydd, newidiadau mewn incwm, toriadau a newidiadau i fudd-daliadau, gostyngiad mewn cyflogau gwirioneddol, y cynnydd mewn costau byw cyffredinol, ochr yn ochr â chynnydd penodol fel cynnydd mewn rhent neu'r dreth gyngor.[14]

Mae'r bobl mae Cyngor ar Bopeth Cymru yn eu helpu yn aml yn ei chael hi'n anodd ymdopi â chostau bob dydd. Ar gyfartaledd, mae gan bobl ag ôl-ddyledion y dreth gyngor sy'n dod atom ni am gyngor arbenigol ar ddyledion, **£16 yn weddill bob mis** ar ôl talu am hanfodion. Roedd gan 2 o bob 5 lai na £0 yn weddill.[15]

Mae'r ffordd mae'r dreth gyngor wedi'i dylunio yn golygu bod biliau eisoes yn gymesur uwch ar gyfer teuluoedd incwm isel.[16] I bobl sy'n ei chael hi'n anodd talu'r dreth gyngor, mae ffioedd a thaliadau ychwanegol yn aml yn anfforddiadwy ac yn ei gwneud hi'n anodd iddyn nhw wella eu sefyllfa ariannol.

11. Cyngor ar Bopeth, The Costs of Collection, Ebrill 2019
12. Mae'r ffi hon wedi'i chapio ar £70 yng Nghymru (Rheoliadau'r Dreth Gyngor ac Ardrethu Annomestig (Diwygio) (Cymru) 2011)
13. Gwefan Cyngor ar Bopeth, Edrychwch pa ffioedd mae beilïaid yn gallu eu codi (cyrchwyd ar 15/3/2021)
14. Canolfan Polisi Cyhoeddus Cymru, Ymateb i Ddinasyddion sydd mewn dyled i Wasanaethau Cyhoedus, Chwefror 2019
15. Cyngor ar Bopeth, data Offeryn Cofnodi Cyngor Ariannol ar gyfer y blynyddoedd 2017-2019
16. Y Sefydliad Astudiaethau Cyllid, Diwygio ac Ailbrisio'r Dreth Gyngor yng Nghymru, Ebrill 2020

# Mae Cynllun Gostyngiadau'r Dreth Gyngor yn hollbwysig ond nid yw bob amser yn rhoi digon o gymorth i deuluoedd incwm isel

Mae Cynllun Gostyngiadau'r Dreth Gyngor (CTRS) yn ffynhonnell hanfodol o gymorth i bobl sy'n ei chael hi'n anodd talu eu biliau treth gyngor. Mae ymchwil wedi canfod bod cynghorau sydd â chynlluniau Gostyngiadau'r Dreth Gyngor mwy hael yn tueddu i fod â chyfraddau gwell o ran casglu'r dreth gyngor hefyd, gan fod aelwydydd sy'n llai abl i dalu yn gorfod talu llai.[20] Fodd bynnag, nid yw'r cynllun bob amser yn effeithiol o ran cefnogi pobl ar incwm isel i fodloni eu rhwymedigaeth treth gyngor.

Amcangyfrifodd ymchwil yn 2017 fod y gyfradd defnyddio CTRS **mor isel â 55-65%**.[21]

Dim ond hanner y bobl yng Nghymru sy'n credu y byddai gan rywun sy'n hawlio Credyd Cynhwysol hawl i ostyngiad ar ei fil treth gyngor.

**Nid yw pawb sydd â hawl i gael gostyngiadau'r dreth gyngor yn manteisio ar hynny.** Mae ymchwil gan Ganolfan Polisi Cyhoeddus Cymru wedi canfod o'r blaen nad yw nifer sylweddol o bobl yng Nghymru yn cael gostyngiadau'r dreth gyngor, er bod ganddyn nhw hawl i'r gostyngiadau hynny.[22] Mae ymchwil Cyngor ar Bopeth Cymru wedi canfod bod ymwybyddiaeth o'r cymorth yn isel, gyda dim ond hanner y bobl yng Nghymru yn credu y byddai gan rywun sy'n hawlio Credyd Cynhwysol hawl i ostyngiad ar ei fil treth gyngor.[23]

**Mae rhai pobl yn colli cymorth oherwydd eu bod wedi symud i Gredyd Cynhwysol.** Mae ein cynghorwyr yn dweud nad yw'r bobl y maen nhw'n eu helpu bob amser yn ymwybodol bod angen iddyn nhw wneud cais ar wahân am CTRS, felly maen nhw'n mynd i ôl-ddyledion y dreth gyngor heb wybod hynny. Efallai y bydd rhai rhieni ac aelwydydd sy'n gweithio hefyd yn gweld bod eu dyfarniadau CTRS yn is wrth symud i Gredyd Cynhwysol, oherwydd sut y cyfrifir yr hawl ar gyfer pobl sy'n derbyn y budd-dal newydd.

**Nid oes gan bob aelwyd sy'n ei chael hi'n anodd talu cost eu biliau hawl i gael CTRS.** Gall taliadau'r dreth gyngor roi baich cost uchel ar aelwydydd incwm isel gan eu bod yn tueddu i dalu mwy fel cyfran o'u hincwm, yn dibynnu ar yr eiddo y maen nhw'n byw ynddo.[24] Mae hyn yn golygu y gall teuluoedd nad ydyn nhw'n gymwys i gael CTRS llawn ei chael hi'n anodd fforddio eu biliau o hyd

20. Policy in Practice, Council Tax debt collection and low-income Londoners, Rhagfyr 2020
21. Canolfan Polisi Cyhoeddus Cymru, Ymateb i ddinasyddion sydd mewn dyled i wasanaethau cyhoeddus, Chwefror 2019
22. Canolfan Polisi Cyhoeddus Cymru, Ymateb i ddinasyddion sydd mewn dyled i wasanaethau cyhoeddus, Chwefror 2019
23. Comisiynodd Cyngor ar Bopeth Opinium i gynnal arolwg ar-lein rhwng 2 - 9 Ebrill 2020
24. Y Sefydliad Astudiaethau Cyllid, Diwygio ac Ailbrisio'r Dreth Gyngor yng Nghymru, Ebrill 2020

# Beth sydd angen ei newid?

Mae sefyllfa ariannol aelwydydd wedi cael ei tharo'n galed gan yr argyfwng Covid-19, sy'n golygu bod llawer o bobl yng Nghymru yn ei chael hi'n anodd talu eu biliau treth gyngor.

Rydym ni'n gwybod bod llawer o'r bobl sydd wedi mynd ar ei hôl hi o ran taliadau'r dreth gyngor mewn trafferthion ariannol difrifol. Mae risg wirioneddol y bydd rhai pobl yn cael eu gwthio ymhellach i ddyled wrth i Awdurdodau Lleol geisio adennill ôl-ddyledion. Ar yr un pryd, nid yw pawb sy'n cael trafferth talu eu biliau yn cael y cymorth sydd ei angen arnyn nhw drwy Gynllun Gostyngiadau'r Dreth Gyngor.

Mae sawl newid allweddol y dylai Llywodraeth nesaf Cymru eu gwneud er mwyn cefnogi pobl sy'n ei chael hi'n anodd talu'r dreth gyngor.

1. **Gwerthuso effaith Protocol Treth Gyngor Cymru.** Dylai hefyd ymrwymo i osod y mesurau gwirfoddol y mae'n eu cynnwys ar sail statudol os oes tystiolaeth nad yw Awdurdodau Lleol yn gweithredu'r protocol mewn ffordd sy'n sicrhau bod y broses o gasglu'r dreth gyngor yn deg ac yn amddiffyn pobl sydd mewn sefyllfa agored i niwed.



2. **Newid y rheoliadau sy'n llywodraethu casglu'r dreth gyngor er mwyn sicrhau nad ydyn nhw'n gwthio pobl ymhellach i ddyled.** Dylai wneud newidiadau i sicrhau nad yw dyledion y dreth gyngor yn cael eu gorfodi mewn ffordd sy'n gwaethygu trafferthion ariannol. Dylai hyn gynnwys:

    - Helpu i atal dyledion y dreth gyngor rhag cynyddu drwy atal y sefyllfa lle mae bil blwyddyn gyfan yn dod yn ddyledus pan fo person yn methu â gwneud un taliad
    - Ei gwneud hi'n haws i gynghorau wella'r broses gasglu drwy roi mwy o bwerau iddyn nhw gasglu dyled mewn ffordd deg heb gael gorchymyn dyled yn gyntaf

3. **Manteisio i'r eithaf ar y cymorth a ddarperir i aelwydydd incwm isel drwy Gynllun Gostyngiadau'r Dreth Gyngor.** Dylai geisio cynyddu'r nifer sy'n manteisio ar y cynllun a gwarantu nad yw pobl sy'n gymwys ar gyfer y cynllun yn colli cyfle oherwydd eu bod wedi symud i Gredyd Cynhwysol.

# Cyfeiriadau


- Cyngor ar Bopeth, The Costs of Collection, Ebrill 2019
- Comisiynodd Cyngor ar Bopeth Opinium i gynnal arolwg ar-lein o 501 oedolyn yng Nghymru. Cynhaliwyd gwaith maes rhwng 2 - 9 Ebrill 2020. Pwysolwyd y data yn ôl oedran a rhywedd i fod yn gynrychiadol o'r boblogaeth oedolion yng Nghymru.
- Cyngor ar Bopeth, data gwasanaeth dienw o'r Offeryn Cofnodi Cyngor Ariannol gan ein cleientiaid dyled ar gyfer y blynyddoedd 2017-2019
- Comisiynodd Cyngor ar Bopeth YouGov i gynnal arolwg ar-lein o 2,086 oedolyn yng Nghymru. Cynhaliwyd gwaith maes rhwng 22 Hydref a 2 Tachwedd 2020. Mae'r ffigurau wedi'u pwysoli ac maent yn gynrychiadol o'r holl oedolion yng Nghymru (18 oed a hŷn).
- Gwefan Cyngor ar Bopeth, Edrychwch pa ffioedd mae beilïaid yn gallu eu codi (cyrchwyd ar 15/3/2021)
- Cyngor ar Bopeth Cymru, Coronavirus Debts Wales, Tachwedd 2020
- Cyngor ar Bopeth A law unto themselves: How bailiffs are breaking the rules, Tachwedd 2018
- Cyngor ar Bopeth Cymru, Effaith Bosibl Coronafeirws ar Ôl-ddyledion y Dreth Gyngor, Ebrill 2020
- Cyngor ar Bopeth Cymru, Facing the cliff edge, Mai 2020
- Compare the Market, HOUSEHOLDS EXPECT IT COULD TAKE THREE YEARS FOR FINANCES TO RECOVER FROM COVID, Chwefror 2021
- DWP, People on Universal Credit, Chwefror 2021
- Sesiwn Dystiolaeth Pwyllgor ELGC 16/07/2020, https://cofnod.senedd.cymru/Committee/6416, Mehefin 2020
- Mae'r ffigurau'n deillio o arolwg a gynhaliwyd gan YouGov Plc ar ran Cyngor ar Bopeth. Cyfanswm maint y sampl oedd 1,002 o oedolion, a chynhaliwyd gwaith maes rhwng 27 Chwefror a 2 Mawrth 2020. Cynhaliwyd yr arolwg ar-lein. Mae'r ffigurau wedi'u pwysoli ac maent yn gynrychiadol o'r holl oedolion yng Nghymru (18 oed a hŷn).
- Y Sefydliad Astudiaethau Cyllid, Diwygio ac ailbrisio'r dreth gyngor yng Nghymru, Ebrill 2020
- Policy in Practice, Deall effaith Covid-19 ar Gynllun Gostyngiadau'r Dreth Gyngor yng Nghymru: Canlyniadau Interim, Chwefror 2021
- Policy in Practice, Council Tax debt collection and low-income Londoners, Rhagfyr 2020
- Rheoliadau'r Dreth Gyngor ac Ardrethu Annomestig (Diwygio) (Cymru) 2011, 21.02.2011, https://www.legislation.gov.uk/cy/wsi/2011/528/made
- Canolfan Polisi Cyhoeddus Cymru, Ymateb i ddinasyddion sydd mewn dyled i wasanaethau cyhoeddus, Chwefror 2019
- Canolfan Polisi Cyhoeddus Cymru, Ymateb i ddinasyddion sydd mewn dyled i wasanaethau cyhoeddus, Chwefror 2019
- Llywodraeth Cymru, Hwb ariannol o £5.5 miliwn i gynllun cymorth y dreth gyngor. Chwefror 2021
- Llywodraeth Cymru, Diwygio cyllid llywodraeth leol yng Nghymru: crynodeb o'r canfyddiadau, Chwefror 2021
- CLlLC, Protocol Treth Gyngor Cymru, Ebrill 2019


Sylwer: daw'r astudiaeth achos sydd wedi'i chynnwys o ymchwil ansoddol gyda chleientiaid dyled Cyngor ar Bopeth. Rhoddwyd enw gwahanol i'r cleient i sicrhau ei fod yn parhau'n anhysbys.

# Cyngor cyfrinachol am ddim.

# Pwy bynnag ydych chi.

Rydym ni'n helpu pobl i oresgyn eu problemau ac yn ymgyrchu ar faterion mawr pan fydd angen clywed eu lleisiau.

Rydym ni'n gwerthfawrogi amrywiaeth, yn hyrwyddo cydraddoldeb ac yn herio gwahaniaethu ac aflonyddu.

Rydym ni yma i bawb.

cyngor ar bopeth citizens advice

citizensadvice.org.uk

Cyhoeddwyd ym mis Mawrth 2021